# GALW'R MÔR

GAN

JOHN EDWARDS.



DREFNEWYDD :

THE WELSH OUTLOOK PRESS,

# CYMERIADAU.

---

BETTY ... ... *Gwraig Capten Llong.*

GWEN ... ... ... ... *Ei Merch.*

*Drama ddychmygol yw "Galw'r Môr," ac nid oes ynddi gyfeiriad at unrhyw berson.*

# GALWR MÔR.

---

## *GOLYGFA.*

*Cegin cartre morwr ar lan y môr yng Ngheredigion. Ar y llaw aswy y mae'r tân, gyda chadair freichiau ar yr aelwyd. Y ffenestr i gyfeiriad y môr, ac o'r tu deheu, ddrws y ty. O flaen y ffenestr bord fechan, a seld yn yr ymyl. Ynghanol yr ystafell y saif bord o faintioli cyffredin. Gwelir ar y mur ddarlun llong ar y môr.*

*Cyfyd y llen ar Betty yn eistedd wrth y tân yn synfyfyrio. Chwery'r gweill rhwng ei bysedd, ac ar adegau y mae'n cynnyg gwëu.*

*Ar fyr daw Gwen i mewn. Erys ennyd ger y drws agored i wrando swn y storm. Ac yna, y mae'n nesu at y bwrdd gan dynnu allan o'i llaw-fasged barsel yn cynnwys crêpe.*

GWEN: Ma'r môr yn curo'n enbyd ar Graig Ifan heno.

BETTY: Ma hi'n arw . . . . ag ynte ma's yco ar y môr.

GWEN: Ro'dd y cymyle'n llanw ar Mynydd Mawr amser godro, a ro'dd y gwynt yn codi pan gychwynes o Porthafan.

BETTY: O mor hapus a fyddwn pe bai e gartre!

GWEN: Fe ddaw adre'n ddiogel—Dydd Sadwrn ma angladd Marged, Pengraig.

BETTY: Marged—Marged—Pam wyt ti'n sôn am angladd Marged?

GWEN: Ro'ch chi am wybod, Mam. Am hynny danfonsoch fi i moyn y crêpe (*yn dangos y crêpe*). A wneiff hwn y tro? . . . . . Mam! (*Ni chymer Betty ddim diddordeb ynddo*).

BETTY (*gan wrando'r môr*): Clyw'r tonne.

(*A gwrendy'r ddwy*).

GWEN: A orweddoch chi wedyn, ar ol i fi fynd?

BETTY: Do, ychydig, ychydig 'merch i.

GWEN: Ma llong nhad wedi bod yn ddiweddar yn amal. Fe ddaw adre'n ddiogel, peidiwch a gofidio . . . . drennydd, neu yfory, neu heno efalle.

BETTY: O daw—fe ddaw adre.

GWEN: Cafodd ei eni a rhwyden! Bydde nain yn gweyd nad oedd dim perigl i reini oddiwrth y môr.

BETTY: Ro'dd *hi* yn meddwl llawer ohono.

GWEN: A chapten llong! Does i well e i gael drwy'r holl wlad.

BETTY: Nid oes derbyn wyneb gan y môr—morwyr da neu wael—ni waeth gan y môr—rhaid i borthi *e*.

GWEN (*yn nesu ati*): Ond mae e'n eitha sâff, mam.

BETTY: Rw i'n *gw'bod* i fod e'n sâff.

GWEN: *Gw'bod* hynny?

BETTY (*yn isel fel pe buasai'n siarad a'i hun*): Dod nol i ddweyd—Dyw e ddim wedi dod nol i ddweyd—Taliaid Glan'rafon—Ddôn nol i gyd i ddweyd.

GWEN (*yn syn*): Dod nol i ddweyd! (*Yn cyrchu album oddiar y ford fechan*).

BETTY: Daeth Dan yn ol . . . . .

GWEN: Dw i ddim yn i gofio.

BETTY: Roedd e wedi croesi cyn i ti dy eni.

GWEN (*gan benlinio, yn rhoi ei bys ar lun*): Taliaid Glanrafon! Roedd bobol Porthafan yn meddwl yn uchel ohonyn nhw. Pun ai William neu Dafydd yw hwn?

BETTY: *Dyna* Dafydd. *Hwn* yw William. . . . Y môr, y môr . . . . Traethsidan.

GWEN: Aeth i long i'r gwaelod!

BETTY : Ar Draethsidan ! Ystorm gynddeiriog—y gwynt yn rhuo a'r tonne'n curo'n ffyrnig ar Graig Ifan—noswaith ofnadwy roedd hi pan ddaeth *e* yn ol i ddweyd . . . .

GWEN (*yn syn*) : Nol i ddweyd?

BETTY (*yn sylweddoli yr hyn a ddywedodd*) : Erbyn y bore roedd y môr wedi i gymeryd e.

(*Distawrwydd, a* GWEN *mewn dyryswch yn edrych ar ei mam.*)

GWEN : Dyma Dan on'te. Hwnnw gwympodd oddiar Graig Ifan ynghanol y storom ddychrynllyd honno.

BETTY : Fu'r storom honno bron a dinistrio'r pentre yn gyfan—a dyma . . .

GWEN : Pwy yw hwn a'r wyneb llon caredig yma.

BETTY : Hwnna. O hwnna yw Owen yr hena.

GWEN : *Fe* adawodd y bedol arian i nhad.

BETTY : Yr unig un na chymerodd y môr mohono.

GWEN (*yn obeithiol*) : Wel, ma raid fod nhad yn ffodus iawn—y rhwyden, a chael y bedol arian.

BETTY : Ah, Gwen, ma'r môr yn gryfach na nhw i gyd—na rhwyden na phedol arian

(*Clywir y tonnau yn rhuo.*)

GWEN (*a'i bys ar lun arall*) : Ma bobol y pentre yn siarad llawer am taid—gwr tal, tywyll i olwg a thanbaid.

BETTY : A man twym yn i galon i bawb—haelionus. Noswaith arw roedd hi pan ddaeth e adre. Roedd nain . . . .

GWEN : Ie . . . .

BETTY : Clywodd i lais e'n galw o'r tywyllwch.

GWEN : Ie . . . .

BETTY : Agorodd y drws.

GWEN : Ie . . . .

BETTY : A roedd neb yno.

GWEN : Neb yno?

BETTY : Ond y gwynt fel ellyllon wedi eu rhyddhau

GWEN : Ar y noswaith y gwnaeth y môr i gymeryd e?

BETTY : Ar y noswaith honno.

GWEN (*yn isel*) : Daniel, Dafydd, William, a Taid ! Ond mam, mam, dych chi ddim yn credu hynna—i bod nhw'n dod nol i ddweyd cyn—cyn—marw.

BETTY : Dw i ddim yn gwybod beth i gredu . . .

GWEN (*yn ceisio newid yr ymddiddan*) : 'Drychwch. Dyma lun nhad pan oedd e'n ddyn ifanc.

BETTY (*yn synfyfyriol yn cau'r album*) : Taliaid Glanrafon !—cryfion, dewrion, Owen . . . Y môr yn i cymeryd nhw . . . . Neb i edrych ar ol i bedde, ond y gwyntoedd a'r gwylanod . . . . Eu lluniau mewn album dyna'i gyd !

GWEN (*yn gosod yr album ar y ford*) : Ond ma nhad yn eitha sâff

BETTY (*gan godi yn gyffrous*) : Cheiff y môr ddim ohono fe hefyd. . . . . Na cheiff . . . . Na cheiff

GWEN : Dyw Duw ddim mor greulon a'u cymeryd nhw i gyd

(*Clywir taro brawychus ar y ffenestr fel taro pig aderyn, a'r storom yn distewi. Edrych* BETTY *yn ofnus i gyfeiriad y ffenestr ac â'n araf tuag ati. Saif yn amheus, a daw yn ol drachefn, Gwen yn edrych yn bryderus arni yn y cyfamser*).

GWEN : Dych chi ddim yn teimlo'n dda, mam. . . . .

BETTY (*yn eistedd*) : Pam wyt ti'n gweyd hynna merch i?

GWEN : Beth sydd ar eich meddwl trwy gydol y dydd?

BETTY : Meddyliau duon sy'n dod i'm meddwl. . . .

GWEN : Peidwch a'u coelo nhw.

BETTY: Rwy'n i hofni nhw . . . O na fu'se yma!

GWEN: O fe ddaw . . . . fe ddaw . . . . Cewch chi i weld e'n dod trwy'r ardd yna fel o'r blaen a'i "Betty, O Betty," a byddwn ninnau yn rhedeg yn llon i gwrdd ag e am y gynta.

BETTY: Dwn i!

GWEN: Mae e byth a hefyd mor llawen—a ch'ythau mor drist

BETTY: Ni fu gwell gwr—

GWEN: Na gwell tad . . . . Cheiff e ddim myned i lawr i'r môr ar ol y tro hwn.

BETTY: Addawodd laweroedd o weithie.

GWEN: Ond does dim angen iddo fynd.

BETTY: Gwen fach, ma rhai, pe bydden yn *gwybod* mai yn y môr y cân orphwys—o dan y tonnau mynyddog—gyda'u brodyr a'u tadau, eto yr ân.

GWEN: Mynd os dyn nhw'n *gwybod* hynny!

BETTY: Ah, mhlentyn i, rwyt ti ddim yn deall nerth y môr. O fel y mae Ben wedi ymdrechu ryddhau ei hunan o'i swyn!

GWEN: Ond mam, does dim anhawster beidio mynd!

BETTY: Wna'th i oreu unwaith, cyn i ti dy eni.

GWEN: Dyn ni ddim yn dlawd  Ma digon gyda ni i fyw arni nhw. Ceiff aros gartre . . . . Byddwn yn hapus gyda'n gilydd—chi, a nhad, a finnau . . . . (*yn dyner*) Mam, mam (*yn myned ati*).

BETTY (*yn ymdrechu cydsynio*): Byddwn . . . . Byddwn.

GWEN: Bydd eich gofidie drosodd wedyn, mam anwyl.

BETTY: Ah, Gwen, nid ti a finnau sydd i benderfynnu hynna.

GWEN: Nag e?

BETTY: Y môr sy'n galw.

GWEN: Dyw nhad byth yn ffaelu ar ol penderfynnu.

BETTY: Arosodd gartre. Roedd wrth i fodd am ychydig. Ond dyma'r swyn yn i feddiannu . . . . dyddie a nosweithie o anesmwythder . . . . Oedd raid iddo 'n gadael.

GWEN: Rhaid!

BETTY: Rwyt ti ddim yn deall y môr pan fo'n galw. Mae'n swyno ac yn denu, a ma raid mynd. Clywaist am y môrforwynion. Efalle mai nhw sy'n hudo—dw i ddim yn gwybod. Ma nhw'n gwenu ac yn sibrwd ar rai, a chan nad faint yr ymdrechan, canlyn a wnan i gyd.

GWEN: Dallan nhw ddim peidio?

BETTY: Clywed y môr? Clywed y môr? . . . . Ymhob man . . . . nos a dydd . . . . yn ewyn y dón, yng nghregyn y traeth, yn i galon i hunan, fanny hefyd . . . . A nawr mae e ma's yco ar y fynwent fawr aflonydd.

(*Clywir swn y tonnau yn cynhyddu*).

GWEN (*yn amheus*): Ys gwn i a odi e'n caru'r môr yn fwy na ma fe'n caru ni, a'i gartre a Porthafan.

BETTY: Caru'r môr? Does neb yn *caru'r* môr.

GWEN: Ond . . . .

BETTY: Gorchymyn ma'r môr, a rhaid i'r sawl a'i glywo ufuddhau.

GWEN (*yn benderfynol*): Dyma'r tro diwedda i nhad.

BETTY: Duw a ŵyr fod Ben yn fy ngharu i, a thi, a'i gartre yn fwy na dim.

GWEN (*wedi ei hofni*): Rhaid iddo aros . . . . Rhaid . . . . Rhaid . . . . O fel ma'n gas genny'r môr! . . . . Gwenieithus, twyllodrus a chreulon! Mor llonydd ar ol storom! Mor ddiniwed ar ol gwneuthur drygioni.

BETTY (*yn syn fyfyriol*): Ie.

GWEN: Odi chi'n cofio'r Sais ifanc hwnnw oedd yn aros yn Glasfryn. Cafodd i foddi ar

waelod Craig Ifan. Es i lawr i'r traeth yn yr hwyr, ac O mor dawel roedd y môr! Doedd i wyneb braidd yn symud. Fel pe bu'se'n llawn a bolon ar ol difetha bywyd ifanc gobeithiol.

(*Clywir swn y tonnau*).

BETTY: Felna roedd y môr pan ddaeth Dan adre . . . . . i ddweyd.

(*Clywir eto y taro brawychus ar y ffenestr, a chwynfan iasol yn graddol raddol ddynesu ac wedyn yn cilio draw.*

*Try* BETTY *yn ofnus i gyfeiriad y ffenestr. Y mae* GWEN *wedi ei dychrynnu. Gwrandawant, ac yna â* GWEN *at y ffenestr. Saif yno fel pe bai yn dilyn a'i llygaid y swn sy'n graddol gilio*).

BETTY (*wedi ei chyffroi*): I fyny o'r eglwys y daeth.

GWEN: Ar hyd ffordd yn eglwys yr aeth yn ol.

BETTY (*yn isel*): Gwen, a fyddi di weithie'n breuddwydio?

GWEN: Ambell waith.

BETTY: Odi'th freuddwydion yn dod yn wir?

GWEN: Nadyn. Nadyn.

BETT/: Ambell waith?

GWEN: Mam, ma pawb yn breuddwydio ar adege.

Betty: Ond ma rhai yn gallu darllen i'r dyfodol.

Gwen: O, mam!

Betty: Angladd Marged—gwelais y cwbwl—Toili.

Gwen: Gwelsoch angladd Marged! Mam, dydd Sadwrn ma angladd Marged.

Betty: Y cynhebrwng, y ffeirad. Doeddwn *i* ddim yno.

Gwen: Ond, mam, byddwch yn mynd i angladd Marged.

Betty: Byddaf (*yn cofio'r toili*). Na fyddaf, fydda i ddim yno.

Gwen: Beth ma bobol Porthafan yn son cymaint am freuddwydion.

Betty (*yn gyffrous*): Odi' nhw'n son am freuddwydion?

Gwen: Hannah'r Hafod a rheina yn clebran heno . . . .

Betty: Ie . . . .

Gwen: Roedden yn ddistaw pan es i atyn, ond clywais nhw . . . .

Betty: Beth glywaist ti?

Gwen: Rywbeth am freuddwydion yn dod yn wir.

BETTY: Fy mhreuddwydion i?

GWEN: Chi?

BETTY: Yn dod yn wir. O nadyn, nadyn. O na fu'se fe gartre!

GWEN (*yn sibrwd wrthi ei hun yn syn*): Am danoch chi ro'n nhw'n siarad? Mam, mam, (*yn ei harwain i eistedd*) Does dim rheswm mewn breuddwydion.

BETTY (*ar ol ychydig, yn synfyfyriol*): Nag oes. Nag oes. Does dim rheswm ynddyn nhw.

GWEN: A odych chi'n credu peth felna!

BETTY: Dyw rheswm ddim yn bobpeth.

GWEN: Cawsom yn y bregeth ddydd Sul diwedda na ddyle neb fod yn bryderus nac yn iselyspryd. Ddylai neb gredu mewn arwyddion ac ysbrydion.

BETTY: Nid yw'r *doetha* yn deall pobpeth.

GWEN: Ond ma nhw wedi darllen, a ma nhw'n gwybod mwy na allwn ni byth obeithio ei wybod.

BETTY: Ma blynydde a phrofiad yn fwy na llyfre, a beth ŵyr arall am yr hyn sy'n reddfol ynnom ni?

GWEN: Ie.

BETTY: Pwy all weyd pam ma bedde Taliaid Glanrafon yn nyfnderoedd y môr? Pwy all

esbonio pam ma nhw'n dod adre i ddweyd . . . .

(*Y taro brawychus ar y ffenestr eto. Clywir twrw'r taranau, a gwelir y mellt yn gwibio trwy'r ffenestr ac yn cynhyddu hyd at ddiwedd y chwareu*).

BETTY (*yn isel*) : Clywaist ti?

GWEN : Clywais . . . . rywbeth. (*Yn myned yn araf at y ffenestr, ac yn dod yn ol yn araf wedyn*). Dim ond y gwlaw yn curo ar y ffenestr. Cer'wch i orwedd, mam. Rhaid i chi beidio edrych felna pan ddaw nhad adre. Dyna ffordd od o'i groesawu e!

BETTY (*yn synfyfyriol*) : Pan ddaw Ben adre!

GWEN : O, mam, dyna groeso iddo—gweld chi mor iselysbryd.

BETTY : Aflonydd, anesmwyth. Dalla i ddim gorwedd yn fy ngwely—na chysgu o feddwl am dano. Neithiwr freuddwydiais . . . .

GWEN (*yn ofnus*) : O, mam, peidiwch.

BETTY : Breuddwydiais weld . . . .

(*Y taro eto.*)

GWEN (*yn isel*) : Beth sy na?

BETTY (*yn myned at y ffenestr, yn brawychu, ac yn dod yn ei hol*) : Aderyn . . . . Yr aderyn corph. (GWEN *yn ofni'n ddirfawr o'r diwedd, yn myned at y ffenestr. Gwêl yr aderyn, cyfeiria ato a'i bys, gan ysgrechain. Fflachia'r mellt*).

GWEN (*yn edrych allan eto*): Mam, mam, dyco long yn hwylio heibio i Graig Ifan. Ma fflachie'r mellt yn i goleuo.

BETTY (*yn gweled y cwbl fel mewn drych, ar ei heistedd*).

GWEN: A nhw byth heibio i Graig Ifan mewn storom fel hon! . . . .

BETTY: Ma'r tonne fel mynyddoedd.

GWEN: Dyna hi i lawr! . . . . Na . . . . Ah . . . . Dyna hi yn erbyn Craig Ifan! . . . . Yr hwylie wedi eu rhwygo . . . . Gwelaf forwyr yn cydio am yr hwylbrenne . . . . Dyna hi wedi neidio yn ol o'r Graig!

BETTY: A'i hwylie'n ysflon . . . .

GWEN: Ah! . . . . ar y Graig eto . . . . Dyna hi'n ddryllie! . . . .

BETTY: Ma'r môr yn llawn dynion! . . . . Ma *fe* yna. Ma *fe* yna . . . .

GWEN (*yn obeithiol*): Gwelaf y cyche yn rhwyfo tuag atyn . . . .

BETTY: Ofer! Ofer! Fy mreuddwyd! Fy mreuddwyd . . . .

LLAIS (*o'r tuallan*): Betty, Ho Betty!

BETTY (*yn codi ac yn myned tuag at y drws*): Clywaist ti? Ben! Ben!

GWEN: Nhad! Nhad!

(*Clywir cnocio ar y drws*).

BETTY (*yn agor y drws. Y mae'r storm yn distewi a thawelwch o'r tuallan*): Ben! Ben! (*yn dod yn ol i'r ystafell*). Ddaeth yn ol i ddweyd. (*Yn cwympo ar ganol y llawr mewn llewyg. Yn y distawrwydd clywir eto y taro arswydus ar y ffenestr, a'r cwynfan brawychus yn dynesu ac yn ymbellhau. Gwrendy* GWEN, *â at ei mam, ac wyla'n druenus*).



